# **Ynni Cymunedol:** Cynyddu cyfraniad mewn marchnad ynni sy'n prysur newid

citizens advice



**Defnyddwyr Ynni'r Dyfodol**

Mae ein rhaglen Defnyddwyr Ynni'r Dyfodol yn ystyried sut y bydd defnyddwyr o bosib yn defnyddio cynhyrchion a gwasanaethau ynni yn y dyfodol, a sut mae angen i farchnadoedd a rheoliadau newid i ddiwallu eu hanghenion.

Mae marchnad ynni'r DU yn newid, ond ychydig iawn o arbenigwyr sy'n teimlo'n ddigon hyderus i ddarogan sut fath o newid sydd o'n blaenau.

A fydd y broses o gynhyrchu ynni yn fwyfwy datganoledig? A ddylai mwy o brosiectau neu gwmnïau ynni fod mewn dwylo lleol? Oes modd denu diddordeb mwy o ddefnyddwyr yn y ffordd maen nhw'n defnyddio ynni?

Mae cefnogwyr ynni cymunedol yn credu y gall amharu'n gadarnhaol ar y farchnad ynni, trwy ysgogi mwy o ddatganoli ar y farchnad ynni sydd naill ai'n eiddo i bobl leol neu wedi'i reoli'n lleol, gyda llawer iawn o ddefnyddwyr yn cymryd rhan, gan leihau costau ac allyriadau carbon yn y pen draw.

Fel y cynrychiolydd statudol defnyddwyr ynni, mae Cyngor ar Bopeth wedi ymchwilio i'r modd mae defnyddwyr yn profi ac yn deall ynni cymunedol.

Mae'r adroddiad hwn yn seiliedig ar ymchwil a gomisiynwyd gan Cyngor ar Bopeth ac a gynhaliwyd gan y *Centre for Sustainable Energy* (CSE) (heb ei gyhoeddi).

Cynhaliodd CSE gyfweliadau manwl gydag ugain o ddefnyddwyr yn ymwneud â saith prosiect gwahanol. Holwyd cynrychiolwyr o 11 o sefydliadau ynni cymunedol hefyd.

# Beth welsom ni



Mae defnyddwyr yn teimlo'n gadarnhaol am ynni cymunedol ar y cyfan ...



...ond dyw tystiolaeth gadarn o arbedion costau, neu fanteision pendant eraill, ddim bob amser ar gael



Mewn rhai achosion doedd pob aelod o'r gymuned ddiffiniedig ddim yn gallu cymryd rhan ...



...ac mae targedu cwsmeriaid bregus yn gallu arwain at oblygiadau anfwriadol



Cafodd rhai o'r defnyddwyr broblemau gyda phrosiectau ynni cymunedol...



...a'r un mwyaf sylweddol oedd anfodlonrwydd gyda'r wybodaeth a ddarparwyd



Mae sefydliadau ynni cymunedol wedi'u hysbrydoli gan y syniad o wneud rhywbeth newydd a gwneud gwahaniaeth i'w cymunedau...



...ond maen nhw'n gallu anghofio am arferion da cyfredol wrth ddiogelu defnyddwyr



Weithiau, mae prosesau cwynion prosiectau ynni cymunedol yn gallu bod yn rhy anffurfiol...



...sy'n risg i sefydliadau sy'n darparu gwasanaethau i unigolion bregus



Mân broblemau oedden nhw'n bennaf, ac roedd cyfranogwyr yn barod i'w diystyru...



...ond dyw hyn ddim yn gynaliadwy i sector uchelgeisiol sy'n tyfu

# Beth yw ynni cymunedol?

Mae Strategaeth Ynni Cymunedol Llywodraeth y DU yn rhannu'r modd mae cymunedau'n ymwneud ag ynni i bedwar gweithgaredd gwahanol:

- **Cynhyrchu ynni** (trydan a gwres)
- **Lleihau'r defnydd o ynni** (mesurau arbed ynni a newid ymddygiad)
- **Rheoli ynni** (cydbwyso cyflenwad a galw)
- **Prynu ynni** (prynu neu switsio ar y cyd er mwyn arbed arian ar ynni)

Mae adroddiad Cyflwr y Sector Ynni Cymunedol Cymru, Lloegr a Gogledd Iwerddon yn dweud bod 228 o sefydliadau ynni cymunedol cyfansoddiadol naill ai'n darparu neu'n datblygu prosiectau sy'n cwmpasu effeithiolrwydd ynni, cynhyrchu ynni adnewyddadwy, trafnidiaeth carbon isel a mwy.

Ar gyfer eich hymchwil, ein nod oedd deall sut mae ynni cymunedol yn gweithio i ddefnyddwyr pan mae'n cynnwys rhyw fath o newid i'r modd maen nhw'n defnyddio neu'n prynu ynni yn eu cartrefi. Felly, mae ein diffiniad ni o 'ynni cymunedol' yn llai eang na'r un a ddefnyddiwyd gan Ynni Cymunedol Cymru a Lloegr.

Dim ond defnyddwyr neu ymarferwyr a oedd yn rhan o brosiectau sy'n cynnig gwasanaeth i bobl yn eu cartrefi a holwyd gennym. Roedd y prosiectau hyn yn cynnwys paneli solar ffotofoltaig 'Rent a Roof', tariffau cyflenwi trydan cyfatebol a chynlluniau 'talu wrth arbed'.

Wnaethom ni ddim edrych ar sefydliadau sy'n cynnig buddsoddiad mewn cynhyrchu ynni adnewyddadwy, neu gwmnïau cyflenwi ynni confensiynol dan berchnogaeth leol / awdurdod lleol (e.e. Bristol Energy / Robin Hood energy).

**Termau:**

**Defnyddwyr**: pobl sy'n derbyn gwasanaethau gan brosiect ynni cymunedol.

**Ymarferwyr:** pobl sy'n gysylltiedig â rhedeg sefydliad cymunedol sy'n darparu prosiect ynni.

**Sefydliadau cymunedol:** gall eu cyfansoddiad amrywiol, ac ni fydd pob un yn canolbwyntio'n benodol ar ddarparu prosiectau ynni.

# Newidiadau o ran cyd-destun polisi Ynni Cymunedol

Yn 2015, cafodd y cynllun Tariff Cyflenwi Trydan (Feed-in Tariff - FiT) ei adolygu a chafodd tariffau eu gostwng yn sylweddol, yn enwedig rhai oedd yn cefnogi paneli solar ffotofoltaig. Roedd llawer o sefydliadau ynni cymunedol, oedd yn dibynnu ar incwm o Dariffau Cyflenwi Trydan, yn poeni y gallai'r sector ddod i stop, ac na fyddai'n gwneud cyfraniad mor sylweddol i'r farchnad ag yr oedden nhw wedi'i obeithio'n wreiddiol.

Ers hynny fodd bynnag, mae modelau busnes newydd wedi dod i'r fei, fel Energy Local – sy'n defnyddio cytundeb prynu pŵer (PPA) a'r farchnad leol fel dewis amgen i gymorthdaliadau'r llywodraeth.

Mae Ofgem a'r Grid Cenedlaethol wedi ymgynghori ar newidiadau i strwythurau'r rhwydwaith trydan er mwyn caniatáu rhagor o hyblygrwydd. Gallai hyn alluogi sefydliadau ynni cymunedol i gynnig systemau rheoli'r galw, masnachu cymheiriaid i gymheiriaid a chynyrchu lleol. Gallai newidiadau yn y dyfodol i fodelau busnes cwmnïau rhwydwaith dosbarthu hefyd weld adfywiad mewn prosiectau ynni llai, gan gynnwys ynni cymunedol.

Dyw ynni lleol a chymunedol ddim yn syniad newydd sbon: caiff ei drafod yn aml yng nghyd-destun marchnad ynni'r dyfodol. Wrth i'r farchnad barhau i newid, bydd digideiddio a'r data sydd ar gael yn ei gwneud hi hyd yn oed yn haws i brosiectau ynni cymunedol arloesi a theilwra modelau i bobl leol ac, yn fwy allweddol, dangos tystiolaeth o fanteision hynny.

> *"The rise of decentralised power has gone hand-in-hand with a democratisation of the energy system. Not only are individuals and communities across Britain increasingly setting up – and co-owning – energy assets, but new business models are emerging that seek to scale up community involvement in energy."* - Forum for the Future 'Wise Minds' (2017)

**Nodyn ar gyflenwi ynni**

Mae'n bwysig nodi bod holl gyfranwyr y prosiectau ynni cymunedol a holwyd yn dal yn gwsmeriaid cwmni cyflenwi ynni confensiynol hefyd.

Problemau gyda biliau a rheoli dyledion yw'r problemau mwyaf sy'n wynebu defnyddwyr. Cyfrifoldeb y cyflenwr ynni trwyddedig yw hyn, yn hytrach nag unrhyw sefydliad ynni cymunedol sy'n cynnig gwasanaethau ychwanegol, felly ni ddaeth hynny i'r amlwg yn yr ymchwil.



## Mae defnyddwyr yn teimlo'n gadarnhaol am ynni cymunedol ar y cyfan

Dau o fanteision prosiectau ynni cymunedol sy'n cael eu hysbysebu amlaf yw biliau ynni rhatach, a lleihau allyriadau carbon.

Roedd y defnyddwyr a holwyd yn credu eu bod nhw'n arbed arian, yn lleihau eu hôl troed carbon, a rhai'n teimlo bod ganddyn nhw fwy o gysylltiad â'u defnydd o ynni. Roedd rhai'n mwynhau'r her o newid neu leihau eu galw am ynni.

Fe wnaethon nhw hefyd gyfeirio at rai manteision anuniongyrchol neu 'feddal', fel cwrdd ag aelodau newydd o'u cymuned drwy'r prosiect, ac ymdeimlad o falchder o fod yn rhan o rywbeth arloesol.

Mae canlyniadau 'meddalach' yn anoddach i'w mesur, ond mae defnyddwyr yn eu gwerthfawrogi, felly dylai sefydliadau wneud eu gorau glas i'w gwerthuso mewn ffordd drefnus, gadarn – e.e trwy arolygon defnyddwyr neu ffurflenni adborth. Mae hyn yn arbennig o bwysig wrth wneud honiadau fel rhan o ymgyrch farchnata prosiect neu wasanaeth newydd.

***"Mae'n dda i'r amgylchedd, ac mae'n dda i fy nghyfri banc."***

***"Roedden ni'n talu £70 y mis, ac mae ein cyflenwr newydd ddweud y bydd yn gostwng i £25."***

**Dyfyniadau gan ddefnyddwyr rent-a-roof**



## Ond does dim tystiolaeth gadarn o arbedion costau neu fanteision pendant eraill ar gael bob amser

Mae modd mesur arbedion biliau a'r lleihad mewn allyriadau yn uniongyrchol. Fodd bynnag, nid oedd y defnyddwyr hynny a gredai eu bod nhw'n arbed arian yn seilio hyn ar unrhyw dystiolaeth gadarn (fel cymharu biliau).

Mewn rhai achosion, doedd gwybodaeth i gymharu hyn ddim ar gael, oherwydd problemau gyda'r mesurydd deallus.

Mae'r ffaith na allwn brofi'n bendant bod prosiect yn cyflawni'r hyn a gafodd ei addo yn broblem: yn enwedig pan ddaw hi'n fater o recriwtio cleientiaid newydd yn y dyfodol.

Dylai tracio'r defnydd ynni, costau misol neu flynyddol, a chyfrifo'r gostyngiad mewn allyriadau carbon fod yn rhan o gynllun y prosiect.

Dylai sefydliadau ddysgu o'r problemau technegol a brofwyd gyda rhai prosiectau, a dylai cyrff ymbarél yn y sector helpu i rannu arferion gorau er mwyn osgoi'r problemau hyn.



## Mewn rhai achosion doedd pob aelod o'r gymuned ddiffiniedig ddim yn gallu cymryd rhan

Gall prosiectau ynni gael eu cynllunio er lles cymuned leol mewn un ardal, neu 'gymuned o ddiddordeb'. Sut bynnag rydyn ni'n diffinio cymuned, mae'n bwysig bod pob aelod yn gallu elwa'n gyfartal.

Ni welodd ein hymchwil dystiolaeth o unrhyw ddefnyddwyr yn cael eu heithirio o brosiectau. Fodd bynnag, roedd rhai yn dal i fethu cymryd rhan mewn prosiectau am resymau'n gysylltiedig â'r cynllun, neu broblemau ymarferol y tu hwnt i reolaeth y sefydliad cymunedol.

Roedd gan rai prosiectau gyfyngiadau ar nifer y cyfranogwyr, neu'n eithrio cartrefi â thoeau oedd yn anaddas i baneli solar. Roedd eraill yn colli allan oherwydd bod eu cartref wedi cysylltu â rhan wahanol o'r grid o gymharu â'u cymdogion ar yr un stryd.

Doedd rhai ddefnyddwyr ddim yn gwybod yn iawn pam na allai eu cartrefi fod yn rhan o'r prosiect, a dim ond esboniad ar lafar oedd y rhan fwyaf wedi'i gael. Dywedodd rhai fod hyn wedi achosi siom a mân-densiynau cymdeithasol rhyngddyn nhw a'u cymdogion.

***"Mae'r trigolion hynny sy'n ddigon ifanc i'w ddeall yn iawn wedi bod yn reit awyddus i gymryd rhan, dw i'n credu. Ond dw i'n gwybod am griw o drigolion sy'n oedrannus ac efo problemau eraill o bosib, sydd ddim yn deall y prosiect."***

**Cwsmer Rent-a-roof**



## Mae targedu cwsmeriaid bregus yn gallu arwain at oblygiadau anfwriadol

Mae rhai sefydliadau cymunedol yn mynd ati'n fwriadol i dargedu pobl hŷn neu anabl, sydd weithiau'n gallu wynebu costau uwch os ydyn nhw angen defnyddio mwy o ynni yn ystod y dydd.

Byddai'r rhai sy'n defnyddio llawer iawn o ynni heb os yn elwa ar filiau is, er yn llai tebygol o allu symud y galw efallai – er enghraifft, os ydyn nhw'n defnyddio cyfarpar meddygol. Gallai tariffau amser y defnydd gynyddu costau i gwsmeriaid bregus, os na allan nhw symud y galw o gyfraddau uwch ar yr adegau brig. Dylai sefydliadau cymunedol sicrhau bod darpar gwsmeriaid yn gallu dewis a fyddai tariff cyfatebol / amser y defnydd yn addas i'w ffordd o fyw nhw.

*"Roedd targedu aelwydydd bregus yn cyd-fynd â'n hamcanion o leihau'r defnydd o danwydd ffosil a charbon a hefyd yn taclo tlodi tanwydd i ryw raddau. "*

Cynrychiolydd prosiect Rent-a-roof



## Cafodd rhai o'r defnyddwyr broblemau gyda phrosiectau ynni cymunedol

Roedd enghreifftiau o broblemau gyda phrosiectau cymunedol yn cynnwys:

- Defnyddwyr ddim yn deall gwybodaeth a gawsant am y prosiect
- Pa mor ddibynadwy yw'r dechnoleg – fel namau ar baneli solar
- Problemau gyda'r mesurydd – ddim yn gallu gweld data amser real, mesuryddion allan o gyrraedd
- Problemau gosod – e.e. mân ddifrod i'r cartref fel dŵr yn gollwng
- Diffyg gwybodaeth gan bartner cyflenwi mewn un prosiect tariff cyfatebol
- Diffyg dewis o ran newid cyflenwyr mewn prosiect tariff cyfatebol
- Partner allweddol i'r sefydliad cymunedol, fel cyflenwr ynni, yn mynd i'r wal

Yn galonogol, ni welsom unrhyw enghreifftiau o ddiffygion mawr, ac ni ddylai'r enghreifftiau a gafwyd gael eu hystyried yn arwydd o broblem systematig gyda'r sector ynni cymunedol.

***"Daeth e'n ôl gyda nodiadau esboniadol, dwy dudalen A4. (...) Felly es i'n ôl ato a dweud, dim ond cerdyn hunanesboniadol gyda'r eiconau ry'n ni eisiau, sy'n egluro beth sy'n digwydd pan mae'r goleuadau'n fflachio."***

**Defnyddiwr Rent-a-roof**



## Y broblem fwyaf oedd anfodlonrwydd â'r wybodaeth a ddarparwyd

Roedd rhai defnyddwyr yn rhwystredig bod y wybodaeth am y modd mae'r prosiect ynni cymunedol yn gweithio yn rhy gymhleth. Roedd y wybodaeth ysgrifenedig yn rhy hir, ac roedd angen graffeg i esbonio syniadau cymhleth.

Rhoddwyd gwybodaeth ar lafar mewn cyfarfododydd cyhoeddus weithiau, ond ddim ar bapur. Felly, roedd defnyddwyr wedi drysu braidd ynghylch sut oedd y tariffau defnydd amser neu eu cyfarpar newydd yn gweithio.

Dylai sefydliadau cymunedol sicrhau bod gan ddefnyddwyr y wybodaeth maen nhw ei hangen i elwa ar eu prosiect.

*"Cyn belled nad oeddech chi'n defnyddio mwy nag un cyfarpar ar y tro, fel defnyddio'ch microdon ar ei ben ei hun a ddim gyda'ch prif ffwrn, yna rydych chi'n arbed arian. Ond os ydych chi'n defnyddio'r ddau gyda'i gilydd, ry'ch chi'n defnyddio'r cwbl ar unwaith. Hynny yw, defnyddiwch nhw ar adegau penodol o'r dydd, fel peth cyntaf yn y bore – dyna'r amser gorau i ddefnyddio'r ffwrn".*

Defnyddiwr ar dariff cyfatebol yn cofio'r wybodaeth a gafodd ar lafar.



## Mae sefydliadau ynni cymunedol wedi'u hysbrydoli gan y syniad o wneud rhywbeth newydd, a gwneud gwahaniaeth i'w cymunedau

Dywedodd ymarferwyr eu bod nhw eisiau gwneud rhywbeth a oedd yn wahanol i'r model cyflenwyr / defnyddwyr prif ffrwd.

Mae'r rhan fwyaf o fodelau yn cynnwys perthynas wahanol â'u haelodau, yn annog pobl i newid eu hymddygiad, i gysylltu'n fwy uniongyrchol â'u defnydd ynni, neu gyfrannu'n uniongyrchol at redeg y prosiect ei hun.

Roedd gan ymarferwyr farn negyddol am y sector ynni prif ffrwd weithiau, ac mewn rhai achosion, wedi sefydlu eu prosiectau eu hunain mewn ymateb i fethiannau tybiedig y model prif ffrwd. O'r herwydd, roedd hi'n well gan rai ymarferwyr gyfeirio at gyfranogwyr eu prosiectau fel 'aelodau' neu 'gydberchnogion' yn hytrach na 'defnyddwyr'. Roedd rhai'n credu eu bod nhw, fel sefydliad moesegol, yn fwy tebygol o drin eu cwsmeriaid yn deg o gymharu â chyflenwyr prif ffrwd.

Nid oedd rhai ymarferwyr yn credu bod materion diogelu defnyddwyr yn berthnasol i'w sefydliad nhw, ac yn eu gweld fel set gul o weithgareddau rheoledig gan gyflenwyr ynni.

> ***"Does dim angen 'proses' arnom ni, achos ry'n ni'n malio am bob un o'n cwsmeriaid"***
>
> **Cynrychiolydd sefydliad Pay-As-You-Save**



## Ond ddylen nhw ddim anghofio am arferion da cyfredol wrth ddiogelu defnyddwyr

Nid oedd ymarferwyr bob amser yn rhoi tystiolaeth glir o ddealltwriaeth neu brosesau cadarn gan gynnwys:

- Darparu gwybodaeth glir a hwylus
- Esboniad digon clir o hawliau'r rhai sy'n ymuno ac yn gadael y prosiect
- Pwyslais ar ddefnyddwyr bregus
- Diogelu data
- Sicrhau bod y dechnoleg yn ddibynadwy

Mae'n bwysig cydnabod bod ynni yn parhau i fod yn wasanaeth "hanfodol i fywyd". Felly, byddem yn poeni pe bai unrhyw sefydliad yn cymryd yn ganiataol eu bod nhw'n trin defnyddwyr yn deg, ac yn eu diogelu nhw.

Bydd arferion gorau mewn ynni cymunedol yn golygu sicrhau bod prosesau cadarn ar waith i ddiogelu defnyddwyr, a'u monitro i sicrhau bod y prosesau hynny'n llwyddo.



## Weithiau, mae prosesau cwynion prosiectau ynni cymunedol yn gallu bod yn rhy anffurfiol neu ad hoc

Roedd defnyddwyr yn hapus gyda'r dulliau gweddol anffurfiol o unioni camau, sydd fel arfer yn golygu cysylltu'n uniongyrchol â'r rheolwr prosiect. Ond mae peryglon i'r dull hwn:

- Mae dibynnu ar unigolyn yn cynyddu'r perygl o beidio â datrys cwynion os nad yw'r unigolyn dan sylw ar gael, neu'n methu â datrys y broblem. Gall fod yn waeth mewn sefydliadau sy'n dibynnu ar wirfoddolwyr.
- Mae hyn yn ei gwneud hi'n anoddach i godi pryderon am yr ungolyn ei hun, ac yn dibynnu ar bersonoliaethau a pherthynas dda rhyngddyn nhw a'r darpar achwynydd
- Nid yw'n ddigon amlwg i'r cwsmer sut fydd yr unigolyn yn trin neu'n datrys ei gŵyn, neu sut y bydd yn unioni unrhyw gam posib

***"Sdim llawer o fynd ar ein llinell gymorth. Dw i'n credu mai problem 'golau coch yn fflachio' yw hi.***

***"Ymholiadau felly rydyn ni'n eu derbyn yn bennaf. Ond maen nhw'n gallu gofyn unrhyw beth. Nid dim ond ar gyfer cwynion; mae ar gyfer unrhyw gwestiwn sydd ganddyn nhw am unrhyw agwedd ar y system dy'n nhw ddim yn ei deall.***

***"Felly, mae system ar gael, ac mae i'w gweld yn gweithio, ond 'sdim llawer o ddefnydd ohoni."***

**Cynrychiolydd prosiect Rent-a-roof**



## Mae hyn yn risg i sefydliadau sy'n darparu gwasanaethau i unigolion bregus

Dydyn ni ddim yn credu bod y problemau a nodwyd yn rhai systematig, a doedden nhw ddim yn rhoi cwsmeriaid mewn risg sylweddol.

Er hynny, mae llawer o sefydliadau cymunedol yn targedu defnyddwyr bregus, fel pobl hŷn, pobl ag anableddau, neu bobl sydd mewn tlodi tanwydd. Felly, mae polisïau diogelu ac unioni yn bwysicach fyth.

Er enghraifft, byddai problemau a welsom gyda mesuryddion a difrod i gartrefi o bosib yn fwy difrifol i gwsmeriaid bregus nag i'r unigolyn a holwyd gennym.

Hefyd, roedd ein hymchwil arfaethedig i dariffau amser y defnydd yn dangos bod rhai aelwydydd yn llai tebygol o allu elwa ar gyfraddau allfrig trwy newid y galw. Felly, dylai sefydliadau cymunedol wirio bod defnyddwyr yn gallu elwa'n bendant ar eu cynnig.



## Mân broblemau oedden nhw’n bennaf, ac roedd cyfranogwyr yn barod i’w diystyru

Roedd llawer o’r prosiectau yn amlwg wedi’u hyrwyddo i ddefnyddwyr fel arbrawf neu beilot, felly roedd defnyddwyr ar y cyfan yn fodlon maddau pan nad oedd prosiectau yn cyrraedd eu disgwyliadau. Roedden nhw’n parhau i deimlo’n gadarnhaol ar y cyfan, oherwydd bod amcanion y prosiect yn apelio at eu gwerthoedd cyffredinol.

Roedd y defnyddwyr y siaradwyd â nhw yn deall eu bod nhw’n cymryd rhan mewn rhywbeth newydd, heb ei brofi o’r blaen, ac yn gwerthfawrogi hyn fel rhywbeth cadarnhaol ohono’i hun.

O ran y problemau a nodwyd yn ein ymchwil, mae Cyngor ar Bopeth yn credu y dylid manteisio ar y cyfle i ddysgu a gwella.

Mae hanes hir o gynnydd pwysig mewn materion diogelu defnyddwyr na ddylid ei ddiystyru yn yr ymdrechion i arloesi. Mae sawl enghraifft o arferion da yn y farchnad ynni brif ffrwd y gallai sefydliadau cymunedol ddysgu oddi wrthynt.

> ***“Dw i’n gwneud hyn ar sail gwerthoedd ac yn ei weld fel rhywbeth hirdymor, ond dyw e ddim yn ymarferol yn fasnachol ar hyn o bryd ... mudiad ideolegol ydi o i bob pwrpas, yn hytrach nag ymgysylltu’n uniongyrchol â’r sector ynni fel y mae.”***
>
> **Defnyddiwr tariff cyfatebol**



## Ond dyw hyn ddim yn gynaliadwy i sector uchelgeisiol sy’n tyfu

Ni ddylai’r sector ynni cymunedol gynllunio i ddibynnu ar ewyllys da defnyddwyr ynghylch trafferthion cychwynnol, neu brosesau cwyno ad hoc amhenodol.  Os yw’r sector i ehangu a chreu’r effaith bellgyrhaeddol y mae llawer o gefnogwyr yn ei gobeithio, bydd angen i ynni cymunedol apelio at grŵp ehangach o ddefnyddwyr sy’n llai tebygol o gael eu cymell gan werthoedd neu’r awydd i drïo rhywbeth newydd.

Dylai rheolwyr cynlluniau geisio dysgu o broblemau cychwynnol a nodwyd gan eraill, a chynllunio i’w dileu o’u prosiectau nhw. Mae straeon am anghyfleustra a chynlluniau annibynadwy yn debygol o atal defnyddwyr llai seiliedig ar werthoedd rhag cymryd rhan.

> *“A dweud y gwir, yr ochr yna - ynni ecogyfeillgar a’r elfen ‘leol’ – oedd y peth mwyaf i ni. Doedd y busnes arbed arian ddim mor bwysig.”*
> Defnyddiwr tariff cyfatebol

## Casgliadau

Rydyn ni'n gwybod bod sefydliadau ynni cymunedol yn gweithio'n galed gydag adnoddau prin i sefydlu prosiectau yng nghyd-destun  polisi heriol sy'n newid.

Er mwyn gwneud yn fawr o'u cyfraniad posib i farchnad ynni'r DU yn y dyfodol, dylai sefydliadau ynni cymunedol fod cystal os nad gwell na'r cwmnïau ynni rheoledig o ran gwasanaethau cwsmeriaid a diogelu defnyddwyr.

Mae cael hyn yn iawn yn gyfle i wneud y gorau dros eu haelodau a'u cyfranogwyr, ac ehangu eu hapêl i grwpiau ehangach o ddefnyddwyr.

**Rhagor o wybodaeth:**

**Dhara Vyas:**
dhara.vyas@citizensadvice.org.uk

Credit: Andy Regan and Zoe Guijarro

citizens advice



Defnyddwyr Ynni'r Dyfodol

## Argymhellion

Beth bynnag yw dyfodol ynni yn y DU, mae'n debyg y bydd prosiectau ynni cymunedol yn rhan o'r dewis sydd ar gael.

Mae Cyngor ar Bopeth, fel corff gwarchod statudol ar gyfer defnyddwyr y sector ynni, yn argymell bod sefydliadau ynni cymunedol yn mabwysiadu pum egwyddor allweddol wrth gynllunio eu prosiectau:



Casglu tystiolaeth o **fanteision pendant** i'r rhai sy'n cymryd rhan



Cynllunio prosiectau **cynhwysol** ar gyfer pob aelod o'r gymuned dan sylw



Ymroi i nodi **ac osgoi effeithiau niweidiol** i ddefnyddwyr



Sicrhau bod trefniadau cadarn ar waith **i ddiogelu** defnyddwyr



Ei gwneud hi'n haws i **unioni pethau** os aiff rhywbeth o'i le